CASGLIAD O

# HEN GANIADAU SERCH:

*Yn cynnwys rhai a briodolir yn gyffredin i*
*Rys Goch ab Rhiccert ab Einion*
*ab Collwyn.*

CAERDYDD.

—

1902.

# RHAGYMADRODD.

Nid oes dim yn fwy o ddirgelwch yn llenyddiaeth Cymru na'r farddoniaeth a briodolir i Rys Goch ab Rhiccert. Cyhoeddwyd ei weithiau barddonol am y tro cyntaf yn yr Iolo MSS. yn 1848. Cyn hyny, mor bell ag a wyddom, nid oes gyfeiriad at y bardd nac at ei farddoniaeth yn holl faes llenyddiaeth Cymru.

Rhan fechan, mewn cymhariaeth, o lenyddiaeth Cymru, yn rhyddiaeth neu yn farddoniaeth, sydd yn argraffedig; erys y rhan fwyaf mewn ysgrif. Hwyrach fod mwy o lawysgrifau Cymraeg wedi myned trwy ddwylaw Dr. Gwenogvryn Evans na neb o'i flaen; etto dywed ef na ddaeth erioed ar draws gweithiau Rhys Goch ab Rhiccert. O holl lenorion Morganwg, cyn amser Iolo Morganwg, ni fu neb yn fwy diwyd na Llywelyn Sion (a fu farw tua 1616) i grynhoi ynghyd hen farddoniaeth Gymraeg, yn enwedig gwaith beirdd Morganwg; ac er fod pum cyfrol drwchus o'i gasgliadau ar gael heddyw, nid oes ynddynt gymaint ag un darn o farddoniaeth o waith Rhys Goch ab Rhiccert, prif-fardd Morganwg.

Pe bai Rhys Goch yn fardd cyffredin, di-allu a di-awen, ni synem fawr fod copiwyr dyfal ein llawysgrifau wedi esgeuluso ei weithiau. Ond yn ystod yr

hanner canrif ddiweddaf y mae llenorion a beirniaid Cymru yn unfryd unfarn wedi cytuno i'w restru ym mhlith prif-feirdd y genedl. Canmolir ef, nid yn unig am y pertrwydd a'r melodedd sydd yn ei ganiadau, ond oblegid iddo ddwyn syniadau hollol newydd i fewn i fyd llenyddiaeth Cymru. Efe oedd bardd natur cyntaf y Cymry—efe, medd rhai, oedd rhagflaenydd ac athraw Dafydd ap Gwilym. Tra yr hoffai ei gyd-feirdd ganu am gelanedd a brwydrau, galar a gwae, ymhyfrydai ef ym myd natur, yn yr adar gwylltion, y coed gleision, a'r nentydd tryloew. Oes modd, ynte, i gyfrif am ddistawrwydd llenorion Cymru yn ei gylch, o William Salesbury i Dr. Davies, o Robert Vaughan i William Maurice ac o Foses Williams i Ddafydd Ellis?

Ar dud. 228 o'r Iolo MSS. y mae Taliesin ab Iolo yn ein hysbysu fod caniadau Rhys Goch wedi eu codi o lyfr John Bradford. Bu John Bradford farw yn 1780.[1] Trigai ym Mettws Tir Iarll. Nis gallwn, felly, olrhain caneuon Rhys Goch ymhellach yn ol, mewn llawysgrif, na dechreu y ddeunawfed ganrif. Ar ddiwedd pob cân yn yr Iolo MSS. ceir a ganlyn:—

> Rhys Goch o Dir Iarll ab Rhiccert ab Einion ab Collwyn ai cant, cylch 1140.

Ni wyddis pwy oedd yn gyfrifol am roddi'r enw hwn wrth y caneuon, ond y mae un peth yn eithaf

---

1. Foulkes, Geiriadur Bywgraffyddol.

sicr. Gan nad pwy oedd yr awdwr, ysgrifenwyd hwy, a barnu oddiwrth yr iaith yn unig, ganrifoedd wedi'r flwyddyn 1140.

Pa bryd y blodeuai Rhys Goch ab Rhiccert? Ceir ei enw mewn achrestrau yn fynych,[2] ac yn union yn yr un ffurf a'r uchod, sef Rhys Goch ab Rhiccert ab Einion ab Collwyn. Gwyddom fod Einion ab Collwyn yn ei flodau tua 1090, ac felly nis gall yr amseriad uchod (1140) fod ym mhell o'i le.

Gwelodd Thomas Stephens[3] fod yn anmhosibl cyssylltu y farddoniaeth a briodolir i Rys Goch ab Rhiccert, ag enw Rhys Goch wyr Einion ab Collwyn, a neidiodd i'r casgliad mai rhyw Rhys Goch arall oedd yr awdwr. Dyma ei eiriau:—

"Rhys Goch may have been descended from Einion ab Collwyn; but he certainly was not the second in descent. The data, from which we arrive at that conclusion are the following:—

"Rhys Brydydd, the son of Rhys Goch, was famed as a poet in 1390.

"In a poem written during the reign of King Richard[4] the Second, who ascended the throne in 1377,

---

2. Pen. MS., 178, p. 41; Llyfrgell Rydd Caerdydd, Ph. MS. 12,126. Harl. MSS. 1977 f. 100, a 4181 f. 214, 219, 220; Egerton MS. 2587 f. 78.
3. Literature of the Kymry (1849), 474; (1876), 454.
4. Iolo MSS., p. 680.

and was deposed in 1399, we find Rhys Brydydd recommended as a fit and proper person to sit upon a jury:—

> 'Let Rhys Brydydd be counted; well known his claims,
> To the composition of legitimate verse.'

"We are informed that Ievan ab Rhys was his son.[5] Rhys Brydydd is also called Rhys Llwyd; and if Ievan Llwyd Brydydd[6] be his son, he lived about 1480. Ievan ab Rhys had two sons, named Thomas and Gruffydd. . . . . . In Thomas ab Ievan's works, we meet with some lines, which set forth his age with considerable accuracy:—

> 'In one thousand six hundred exactly,
> And four years complete,
> The beginning of January (fair computation),
> I am one hundred and thirty.'[7]

"Therefore, if in 1604 he was 130 years old, he must have been born in 1474; and as Malkin asserts, that "it can be satisfactorily proved that he was living in 1615,"[8] he must have been at least 141 years old at his death. . . . . . Let us now retrace our steps. Thomas ab Ievan ab Rhys was born in 1474; his father was the son of Rhys Brydydd, who lived in or about 1390; and therefore as Llwyd has shown that Rhys Brydydd was the same person as Rhys Llwyd, and that Rhys Llwyd was the son of Rhys (Goch) ab Rhiccert, the

5. Iolo MSS., p. 615.
6. Llwyd's Arch. Brit., p. 257.
7. Iolo MSS., p. 615.
8. Malkin's South Wales, Vol. II., p. 549.

latter should not be placed further back than the year 1350."[9]

Nid yw Stephens yn rhoddi ei awdurdod dros ei osodiad cyntaf, sef fod Rhys Brydydd yn fab i Rhys *Goch*. Hwyrach iddo ddyfod ar draws enw Rhys Llwyd ap Rhys ap Rhiccert, awdwr y cywydd rhagorol i Ynys Enlli sydd yn dechreu "Aethum i fâd ddyw Sadwrn." Gwelodd fod Edward Lhuyd yn dywedyd mai yr un gwr oedd Rhys Brydydd a Rhys Llwyd, a chasglodd ar ei gyfrifoldeb ei hunan mai Rhys *Goch* ab Rhiccert, ac nid Rhys ab Rhiccert, oedd enw tad Rhys Brydydd.[10]

Ei ail osodiad yw mai Rhys Brydydd (Morganwg) oedd y Rhys Brydydd "recommended as a fit and proper person to sit upon a jury," ym mrawdlys Caerfyrddin A.D. 1390. Ond nid oedd yn bosibl i wr o Forganwg eistedd fel rheithwr yn Nghaerfyrddin, a phan yr ydym yn cael ar ddeall fod un "Res Bridydd" yn un o denantiaid y Brenin yn Sir Aberteifi yn 1399,[11] credwn mai ato ef y cyfeirir yn y cywydd.

Yr oedd gwr o'r enw Rhys Brydydd yn byw ym Morganwg flynyddau lawer yn ddiweddarach. Rhoddir

9. Stephens, Lit. Kym., p. 474-6 (*ed.* 1849).

10. Y mae Ed. Lhuyd yn gwahaniaethu rhwng "Rhys Brydydh alias Rhys Lhuyd po. an. 1480" a "Rhys Lluyd ap Rikkart po. an. 1460." Arch. Brit., tud. 263. Ond gweler hefyd Myf. Arch. (ail arg.), tud. 826, lle dywedir fod yr olaf yn dad i Lewys Morganwg.

11. Record Office, Minister's Accounts, 1159, No. 14.

ei achau yn y Peniarth MS. 178 tud. 41, llyfr a ysgrifenwyd gan Ruffydd Hiraethog tua 1545,[12] pan yr oedd Lewys Morganwg ar dir y byw:—

"Lewys Morganwc penkerdd ac athro kelvyddyd kerdd davawd drwy holl gymrv yr hwnn a elwir Ll'n ap Rissiart Morganwg prydydd a phenkerdd ap *Rys brydydd* penkerdd o gelvyddyd kerdd davawd ap J. ap ho'l ap R: vychan ap R. voel ap Rys goch ap Rikert ap einion ap gollwyn.

"Gwilim tew prydydd a phenkerdd ap Rys brydydd ap J. ap ho'l, &c."

Fe sylwir fod y Rhys brydydd hwn yn dad i Rissiart Morganwg ac i Wilym Tew (Morganwg) ac yn dad-cu i Lewys Morganwg.

Yn awr, os troir i'r Iolo MSS., tud. 200, ceir a ganlyn:—

"Rys Brydyth o lanharan or ty ym maelen Kynllan a little Ryver of that name wher Ievan gitto ap Ieva yscolaige dyd dwell. o Rys brydyth y bu Rychard ap Rys, y Rychard y bu llen ap Rychard, yr hwn y elwid yn lewis morganwg yng wynedd. Ve vy vab arall y Rys brydyth a elwid Ieva ap Rys, y Ievan ap Rys y bu tho: ap Ieva ap Rys, yr hwn elwid tom ap Ieva ap Rys gwndidwr."

12. Cat. Welsh MSS. II., p. 992.

Cytuna yr uchod a'r hyn geir yn llyfr Gruffydd Hiraethog, ac y mae Lewys Morganwg yn wyr i Rys Brydydd yn ol y ddau lyfr. Gellir penderfynu amseriad Lewys Morganwg oddiwrth ei gywyddau, canys bu yn canu o 1526 hyd 1548.[13] Fe ddichon fod Rhys Brydydd ei dad-cu yn canu rhyw bedwar-ugain mlynedd o'i flaen ef, dyweder o 1446 i 1468.[14]

Yn ol y Peniarth MSS. uchod, nid Rhys Goch oedd enw tad Rhys Brydydd, ond Jevan ap Howel ap R. Vychan. Dengys y ffeithiau hyn o leiaf fod Mr. Stephens ar dir sigledig iawn pan yn tynnu ei gasgliad fod Rhys Goch yn byw tua 1350.

Ond ym mhellach, pe profid fod gwr o'r enw Rhys Goch yn blodeuo tua 1350, ni fyddem ronyn yn nes at brofi mai efe gyfansoddodd y caneuon a briodolir i Rys Goch ab Rhiccert ab Einion ab Collwyn, yn yr Iolo MSS. Mewn gwirionedd, y mae'r enw Rhys Goch yn un hynod o gyffredin ym mysg y beirdd ym mhob oes. Ceir er esiampl: Rhys Goch Eryri, Rhys Goch Glyndyfrdwy, Rhys Goch ab Dafydd (1466), Rhys Goch o Vogarn, Rhys Goch o dir Gwent (1560), Rhys Goch glan Ceiriog, a Rhys Goch o Ddyfed.

---

13. Canodd farwnad ar ol Syr Rhys ab Thomas yn 1526, a chywydd o glod i Syr John Prys "pan wnaethpwyd yn Varchog" (Ball. MSS., 353, fol. 24). Gwnaed Syr John yn Farchog yn 1546-7.

14. 1480 yw'r amseriad rydd Ed. Lhuyd iddo. Arch. Brit., tud. 263.

Ar y cyfan, felly, credwn y rhaid penderfynu amseriad ac awduraeth y farddoniaeth a briodolir i Rys Goch ab Rhiccert ar wahan i'r enw, a rhaid edrych am gymhorth i wneuthur hynny o ryw gyfeiriad arall.

Ceir yn yr Amgueddfa Brydeinig, ym mysg y llawysgrifau a gasglwyd gan Gymdeithas y Cymmrodorion, un llawysgrif sydd yn taflu rhyw dipyn o oleuni ar fater ein ymchwiliad. Rhif y llawysgrif yn y Cofrestr Swyddogol yw *Additional MS.* 14,974. Y mae ynddo ôl llawer llaw, o'r amser y dechreuwyd ei ysgrifenu tua'r flwyddyn 1590 i lawr hyd y ganrif ddiweddaf. Y mae'n anhawdd dywedyd i sicrwydd beth fu helynt y llyfr yn ystod y ddwy ganrif cyn iddo ddyfod i feddiant y Cymmrodorion, ond fel y ceir gweled, y mae sicrwydd ynghylch rhai o'i berchenogion.

Bu y llyfr yn gyntaf oll ym meddiant rhyw ysgrifenydd oedd yn fedrus yn y Lladin a'r Eidalaeg. Ceir ynddo nifer fawr o ddiharebion a dywediadau cynhwysfawr wedi eu codi o'r ieithoedd hyn. Ar dud. 46 ceir y dyddiad 1590. Yn yr un llaw ceir a ganlyn :—

> "Un discorso per la Reformatione del reame d'Irlandia scritto per Phillip Williams al rechiosto del Caueglieri Joan Perrot che lo presentena al eccelentiss . . . . . . Regina Helisabethe in Augusto, 1582, tradutto eut Ital . per A.B."

Yr oedd Phillip Williams yn ysgrifenydd i Syr John Perrott pan oedd yr olaf yn Arglwydd Raglaw yn yr Iwerddon. Cyfeirir atto yn barhaus o Mawrth 1584 ym mlaen, yn y State Papers. Efe fu, gydag eraill, yn foddion i ddarostwng Syr John. Hwyrach fod y *discorso* yn gyfieithiad o draethawd argraffwyd wedi hyny yn 1626 gan ryw E.C.S. dan yr enw "The Government of Ireland under Sir John Perrott" (tud. xi.—xxxii). Ond beth allasai fod y cyssylltiad rhwng ysgrifenydd yr Eidalaeg uchod â Syr John Perrott neu Phillip Williams?

Ar dud. 88 ceir rhestr o ardrethoedd ystad Syr Robert Salesbury[15] o Rug, Sir Feirionydd, gydag enwau'r tenantiaid. Bu Robert Salesbury farw yn 1599.[16] Felly ysgrifenwyd y rhestr tua'r flwyddyn honno. Gadawer i ni alw y llaw hon yn llaw A. Ynddi yr ysgrifenwyd y caneuon, Rhif 2, 11, 12, 13 a 14 a argreffir yn y llyfr hwn.

Ar dud. 71 ceir ysgrifen a llaw-nod un Hughe Robertes, Clerk, person Gwyddelwern yn 1615, ac hwyrach mai yn ei lawysgrif ef y mae'r caneuon Rhif. 3, 4, 5, 6, 7, 8, 9, 10. (Llaw B.)

Tua'r un adeg hefyd ysgrifenwyd y gân gyntaf sydd yn y llyfr gan un Phillip Salesbury. (Llaw C.)

---

15. Gwnaethpwyd Robert Salesbury yn Farchog yn yr Iwerddon tua Ionawr, 1593-4, a bu yn gwasanaethu'r Frenhines yno am dros flwyddyn wedi hyny. Hwyrach fod y ffaith yma yn esboniad ar yr ysgrifen uchod. *State Papers*, Ireland, 1592-6.

16. Gorff. 14, 1599, Inquis. Post Mortem, Eliz. 262, No. 131.

Yn 1637-1638 yr oedd y llawysgrif (*Addit. MS.* 14,974) ym meddiant William Salesbury o Rug (Llaw D.), a'r tebygolrwydd yw fod y llyfr wedi ei gadw yn Rhug o'r flwyddyn 1599 hyd 1638. Yn nechreu y ddeunawfed ganrif yr oedd ym meddiant y Parch. Edward Ffoulkes, Rheithor Caerwys, yn 1733 ym meddiant Gabriel Salesbury, ac yn 1748 ym meddiant David Jones, Trefriw (yr argraffydd).

Y mae un peth yn lled sicr, sef fod y farddoniaeth a argreffir yn y llyfr presenol wedi ei ysgrifenu yn y llawysgrif rhwng 1599 a 1638 tra yr oedd y llyfr ym meddiant y Salsbriaid yn Rhug.

Bu Syr John Salesbury o Rug farw yn 1580 gan adael tri o feibion, Sir Robert (bu farw 1599), John a William. Adnabyddir yr olaf wrth yr enw "Hosanau Gleision," ac efe amddiffynodd Gastell Dinbych yn y Rhyfel Cartrefol. Nid oes sicrwydd beth ddaeth o John, ond y mae lle i gredu mai efe oedd y John Salesbury o Sir Feirionydd a gyhoeddodd yr "Eglurhad Helaethlawn o'r Athrawiaeth Gristnogaul"[17] yn y flwyddyn 1618. Os felly, ganwyd ef yn 1575, ymaelododd yn ngholeg St. Alban, Valladolid, yn 1595, urddwyd ef yn offeiriad Pabaidd yn 1600, a daeth adref i Gymru yn 1603. Yn 1615, dilynodd y Tad Robert Jones fel "Superior of the North and South Wales District," aeth i fyw i Gastell Rhaglan, a bu farw yn 1625.[18]

---

17. Llyfryddiaeth y Cymry, tud. 93.

18. Foley, Cyf. IV., 335, 392, 471, 501; VII., 325, 681, 1450, Dict. Nat. Biog. (D. Ll. T.) Ar y llaw arall gelwir John yn

Cynhwysa'r llyfr lawer iawn o farddoniaeth Babyddol, a cheir ynddo ddigon o brofion mai Pabydd oedd ei berchenog ar un adeg. Gwelsom eisioes fod John Salesbury yn llenor Cymreig, ac yr oedd ei frawd William Salesbury yn cymeryd dyddordeb neilltuol ym marddoniaeth y Cymry.[19] Yn 1615 aeth John Salesbury i Gastell Rhaglan, lle yr oedd casgliad ardderchog o lawysgrifau.[20] Y mae yn eithaf tebyg iddo gymeryd rhai o'i lawysgrifau Cymreig gydag ef yno, ac hwyrach fod yn eu plith y llawysgrif o ba un y codwyd y caneuon sydd yn yr *Addit. MS.* 14,974. Os felly y mae'n hawdd gweled sut y cafodd beirdd

---

Captain John Salesbury mewn rhai achrestrau. Wedi i ni ysgrifenu yr uchod, daethom ar draws Inquis. Post Mortem John Salesbury, mab ac etifedd Syr Robert. Bu ef farw ar y 1af o Ionawr, 1607, yn fachgen deng mlwydd oed. Ei ewythr John Salesbury, brawd ei dad, oedd ei aer, a ganwyd ef, yn ol yr Inquis. Post Mortem, yn 1575. Ar y 24ain o Fawrth, 1611-2, cynhaliwyd Inquis. Post Mortem ar feddiannau John Salesbury, brawd Syr Robert, a chafwyd mai William Salesbury oedd yr aer, yntau pryd hyny yn 30ain mlwydd oed. Ond ni ddywedir yn yr Inquis. Post Mortem olaf pa bryd y bu John Salesbury farw. Os yn offeiriad Pabaidd, nid oedd hawl ganddo i sangu ar dir Lloegr, chwaethach i ddal tir yno. Hwyrach mai marw yn ngolwg y gyfraith yn unig yr oedd, a bod ei berthynasau, er mwyn achub yr ystâd rhag *escheat*, wedi dyfeisio y ffordd hon o wneyd hyny. Fodd bynag, y mae yn hynod fod y ddau John Salesbury, sef mab y Rhug a'r offeiriad Pabaidd, wedi eu geni yn yr un flwyddyn ac yn yr un gymydogaeth. Dan yr amgylchiadau, gadawn yr uchod i fewn; poed cywir ai anghywir, y mae'n amlwg ddigon mai Pabydd ysgrifenodd y rhan fwyaf o'r ysgrif-lyfr ynghyd â'r caneuon dan sylw, a gwyddom fod cyssylltiadau agos rhwng Pabyddion Gogledd Cymru a theulu pendefigaidd Rhaglan.

19. Carolau R. Hughes, tud. 7, 8.

20. Cyfrinach Beirdd Ynys Prydain (1829), tud. xii.

Morganwg afael arnynt, oblegid gwyddom fod Llywelyn Sion ac efallai Edwart Dafydd yn cael caniattad i fyned i'r llyfrgell.[21] Bu farw Llywelyn Sion tua 1616, a rhydd hyny esboniad ar y ffaith nad oes dim (cyn belled ag a wyddom) o waith Rhys Goch ab Rhiccert yn ei lawysgrifau ef.

Bellach, trown at y caneuon a argreffir yn y llyfr hwn. Y mae pump o honynt, sef Rhif. 2, 3, 4, 5, 6, yn cael eu priodoli i Rys Goch ab Rhiccert yn yr Iolo MSS. Ysgrifenwyd Rhif 2 yn llaw A. (1599) a Rhif. 3, 4, 5 a 6 yn llaw B. (1615). Gan y priodolir y pump i un awdwr yn yr Iolo MSS., y mae rhyw gymaint o sail genym dros dybio fod dau wr ar wahanol adegau, ym mhalasdy Rhug, wedi codi'r caneuon o'r un ysgriflyfr. Ond ar wahan i'r hyn a geir yn yr Iolo MSS. y mae llawer o debygolrwydd rhwng Rhif 2 a'r caneuon eraill, digon, fe ddichon, i brofi mai gwaith yr un awdwr ydynt. Ac os caniatteir hyn, beth sydd yn fwy naturiol na thybio fod gwaith yr awdwr wedi ei gasglu ynghyd mewn un llyfr, ac feallai fod y llyfr hwnnw ym meddiant y Tad John Salesbury.

Yr ydym yn ymresymu fel hyn er mwyn rhoddi rhyw esboniad ar y ffaith ryfedd, nad yw'r caneuon hyn i'w cael yn unman ond yn llawysgrif John Bradford, ac yn yr *Addit. MS.* 14,974.[22] Caniattaer am foment

21. *Ibid.*, tud. xii., xiii.

22. Ond ceir darn o Rif III. mewn un llawysgrif arall, gwel. tud. 18 isod.

fod y caneuon wedi eu cyfansoddi tua diwedd yr unfed ganrif ar bymtheg, a'u hysgrifenu mewn llyfr a ddaeth i feddiant y Tad John Salesbury. Tra y trigodd John Salesbury yn ei gartref yn Rhug, cafodd rhywrai egwyl i gopïo rhanau o'r llyfr. Wedi iddo fyned i Raglan, hwyrach y cafodd Edwart Dafydd neu un arall o feirdd Morganwg gyfleustra i godi peth o'i gynnwys. Llosgwyd llyfrgell Rhaglan yn amser Oliver Cromwell,[23] a'r llyfr gwreiddiol gydag ef. Yna nid oedd ar gael ond copïau beirdd Morganwg a'r *Addit. MS.* 14,974.

Ond pa bryd yr ysgrifenwyd y caneuon hyn? Dywedasom eisoes nad yw'r ffaith fod enw rhyw Rhys Goch wrthynt yn yr Iolo MSS.—a'r enw fel y ceir ef yno yn sicr o fod yn gamgymeriad—yn rhoddi fawr o gymhorth i ni i benderfynu'r ddadl. Ac yn wyneb y ffaith nad oes enw o gwbl wrthynt yn yr *Addit. MS.* 14,974, rhaid i ni geisio ffurfio barn ar amseriad y caneuon heb gymeryd yr enw Rhys Goch i ystyriaeth pellach.

Y mae Mr. Thomas Stephens, ar ol ceisio dangos fod rhyw Rys ap Rhiccert yn byw tua 1350, yn myned ym mlaen i ddyweyd:—

> "The internal evidence of the poems also countenances this conclusion; the absence of Cynghanedd, which soon became the *sine qua non* of Cambrian poetry, proves that they could not have been later than 1350; and the

23. Cyfrinach Beirdd, tud. xiii.

> structure, language, and allusions show that they were not much earlier."[24]

Ar y goreu, nid ydym yn credu fod yr ymresymiad hwn yn gryf. Y mae yn anmhosibl profi fod pob bardd o amser Dafydd ap Gwilym i waered wedi canu yn y mesurau caethion.

Ac y mae Mr. Stephens yn anghywir pan yn dyweyd nad oes cynghanedd yn y caneuon. Brithir hwynt a chynghanedd o bob math, ond y mae yn fynych yn wallus iawn. Ceir cynghanedd hefyd yng ngweithiau y beirdd cyn amser Dafydd ap Gwilym, ac y mae'n amlwg fod yr hen ddulliau o gynghaneddu yn cael eu harferyd mor ddiweddar ag amser William Middleton.[25]

Ar yr ochr arall, gallwn yn ddibetrus ddweyd fod ffurf ac iaith rhai o'r caneuon yn perthyn i oes lawer diweddarach na 1350.

Awn ymlaen i sylwi ar y caneuon a argreffir yn y llyfr hwn, ond cofied y darllenydd fod y caneuon fel yr ysgrifenir hwy yn *Addit.* 14,974 yn hynod o wallus, ac yn an-orffenedig, er esiampl, Rhif ix., lle mae'r ysgrifenydd yn ychwanegu dwy linell gellweirus.

Yn y seithfed gân (tud. 40) ceir enw yr awdwr:—

> "O daw gofun pwy a ganodd hyn,
> Llywelyn ap Hwl a'ch kar ddwbwl."

---

24. Lit. Kym., tud. 476 (1849) a 456 (1876).
25. Gwel ei Psalmau, arg. 1603.

Y mae'n amlwg oddiwrth hyn mai rhyw Llywelyn ab Hwlcyn neu Hywel oedd yr awdwr. Mewn llaw diweddarach ar ddiwedd y gân ceir y geiriau hyn "Llewelyn ab Hywel ap Ieuan ap Gronwy ai Kant." Blodeuai Llywelyn ab Hywel tua 1500 yn ol rhai,[26] a 1540 yn ol eraill.[27] Y mae o leiaf naw o'i gywyddau ar gael, ond nid ydynt yn tebygu o gwbl i'r caneuon a geir yn y llyfr hwn. Ar y llaw arall, yr oedd bardd o'r enw Llywelyn ab Hwlcyn, a amserir o 1540 i 1570[28]; ond un yn unig o'i gyfansoddiadau efa welsom. Cân fechan yw honno, a chyfleir hi ar ddiwedd y llyfr (Rhif xv.) Yn yr *Addit. MS.* 14,974 y mae'r caneuon Rhif 3—10 oll wedi eu hysgrifenu yn yr un llaw â Rhif 7, y gân a gyfansoddodd Llywelyn ab Hwl. Credwn hefyd fod llawer iawn o debygolrwydd cydrhyngddynt yn ogystal yn y ffurf ag yn y drychfeddyliau.

Ceir amryw brofion diamheuol o ddiweddarwch y caneuon fel eu ceir yn yr *Addit. MS.* 14,974. Yn gyntaf, sylwer ar y rhigwm sydd ar ddiwedd y caneuon Rhif 1, 2, 3, 4, 7, 8 ac 11.

> "O daw gofyn pwy a ganodd hynn
> Mab a chalon gowir ffyddlon."

Ni ddygwyddasom weled rhigwm cyffelyb, ar ddiwedd darn o brydyddiaeth, yn foreuach na'r flwyddyn 1588.[29] Ond daeth yn arferiad cyffredin iawn yn y ddwy ganrif

---

26. Moses Williams, Repert. Poet. Wall, 1726.
27. Thomas Richards's Dict., 1753.
28. Geiriadur Ffoulkes, tud. 701.
29. Hen Gerddi Gwleidyddol, tud. 11.

ddilynol. Drachefn brithir y caneuon ag ymadroddion a ffurfiau diweddar:—

"Hi a dru weith*ie* amgylch y dr*e*" (tud. 40),

lle ceir *weithie* yn odli a *thre*, ffurf ddiweddar iawn o *thref*. Yn wir, y mae'r caneuon, ag eithrio ambell i air, mor hawdd eu deall â gweithiau beirdd y ddeunawfed ganrif.

Y mae Cân VI. yn dwyn llawer o olion diweddarwch, yn enwedig yn y cydgan sydd ar ddiwedd pob penill:—

"Ow, ow, tlyse, ow, ow, tlyse."

Hefyd, sylwer fod y bardd yn dechreu pob penill newydd â gair olaf y penill o'r blaen (yr hyn eilw'r beirdd yn gyrch-gymmeriad), a cheir Llywelyn ab Hwlcyn yn gwneyd yr un peth yn ei gân Rhif. XV.

Ond barnwn mai doethach yw gadael ystyriaeth llawnach o'r cwestiynau hyn hyd nes y cyhoeddwn gyfres helaethach o ganeuon yr unfed ganrif ar bymtheg. Cawn wedy'n gymharu caneuon y Pseudo-Rhys o ran eu sylwedd a'u ffurf a chaneuon eraill o'r un natur.

Y mae genym un ffaith arall sydd yn tueddu i brofi diweddarwch y caneuon. Mewn llawysgrif (*Addit.* 14,992) a ysgrifenwyd gan Risiart Morris (brawd Llewelyn Ddu o Fon) yn ei ieuenctyd, ceir nifer mawr o gerddi, carolau, â hen benillion llafar gwlad. Yn eu plith (tud. 68) y mae'r gân hon:—

Cla wi o serch annerch Anni
Oni chai mewn awr lliw gwawr lili
Nid yw yr lili gerddi gwrdion
Deckach o brud na gwrid *gwenfron*.

*Gwenfron* galon golwg gweisgi
Lliw ailia cwur yn llwur di am lleddi
Ni ladd cangen, fo ladd fwuniaith.
Hi m gad yn fyw mae rhiw *obaith.*

Mae imi *obaith* odiaeth hedudd
I'w chael mewn awr lliw gwawr hafddydd
Hafddudd sudd a son su am dani
Lliw ailia cwur yn llwur di 'm lleddi.

Clywodd Rhisiart Morris y gân hon yn ddiau ar lafar gwlad ym Môn. Ac y mae cân arall sydd yn debyg iawn iddi yn yr un llyfr. Sylwer fod cyrch-gymmeriad yn y gân uchod, fel yr ysgrifener hi gan Risiart Morris, yn gyffelyb i Rif V. a XV.

Yn awr, y mae'n anhawdd deall sut y gallasai cerdd o waith un o feirdd Morganwg—oblegid priodolir y gân uchod i Rys Goch ab Rhiccert[30]—fod ar lafar gwlad yn eithafion Sir Fôn. A phan gofiwn fod y gerdd hon a'r cerddi eraill briodolir i Rys Goch mor anhysbys fel na cheir hwynt mewn nemawr i law-ysgrif, y mae bron yn anhygoel mai bardd o Forganwg oedd yr awdwr.

Ar y llaw arall, gwelsom fod caneuon tebyg iawn mewn drychfeddwl, arddull, ac ymadrodd, yn cael eu priodoli i Lywelyn ab Hwlcyn o Fôn, bardd oedd yn ei flodau rhwng 1540 a 1570. Os Llywelyn oedd awdwr "Claf wy' o serch, annerch Anni," byddai yn naturiol disgwyl fod y gân ar lafar gwlad yn ei sir enedigol o fewn rhyw gan' mlynedd a hanner ar ol ei farwolaeth.

---

30. Cymharer â Rhif III.

Ond nid oes genym ddigon o brofion i dynnu'r casgliad hwn, a hwyrach mai 'r peth doethaf ydyw dyweyd yng ngeiriau y bardd ei hun,

> "O daw gofun pwy a ganodd hyn,
> Pam waeth pwy fo, darfu am dano."

Dau beth sydd yn dra sicr: sef mai nid Rhys Goch ab Rhiccert a gyfansoddodd y caneuon a briodolir iddo yn yr Iolo MSS., ac yn ail, mai mewn oes ddiweddarach nag oes Dafydd ap Gwilym y cyfansoddwyd hwynt.

# CYNWYSIAD.

# HEN GANIADAU SERCH.

## I.*

Dowch i wrando arna i yn kwuno,
Am fy llatai erbun kalamai,
Yr eos a fu im gwasnauthu,
Rwi yn gobithio i daw etto,
Fo fu yr eos mwu nog wuthnos
Heb gysku hun rwng riw ddauddun,
Ond dwun anerch rof a gwenferch
Ar hud 'r ha ar kynhaia,
Ni bydde 'r un chwarter blwuddun
Ar da Ynghymru kyd heb gysku,
Ni bydde 'r un byth mor gyflim,
A chyn fwuned a roi atteb.

Gwul Fiangel, mewn lle dirgel,
I kanodd hi yn iach imi,
Yn iach, myn dyn, im ederun.
Ai gwiw keisio genuch dario?
Na wiw yr Kymro, mi a imguddi
Oni del mis Mai a gwurdd gangai,
Na ddowed ir un i ble'r euthum,
Mi a ddo adre beth kyn klame.
Os trig f'eos fwu nog wuthnos,
Ynol klame, gwiliwch finne.
O daw ymofun pwu a ganodd hyn
Dyn yn aros wrth yr eos.

---

* Llaw C.

## II.*

Gorthrwm a thrwm a thrist fydda,
Ni charaf un tro tra fo yr gaia,
Oni ddelo mis Mai glasai glwiswudd
Budd gwrddlen llen pen por irwudd.
Mae i mine blas, urddas, irddail,
Mewn man or budd, hyfrud adail,

Mewn llwun heb furdd, du wurdd dyfiad,
Hardd grwn, hud i gwn, krwm kwmpassiad.
Ni ddaw im plas mon kas ddynion,
Ond rrai medrus, moddus, mwinion.
Taklen parlwr purlen drosto,
Hyfrud o brud klud pen ddilio;

Llei kan kyntedd mwunedd manwudd,
Ar lawr mellion glision glaswudd;
A chog serchog ddoniog ddownus
Yn kanu yn lwus lais kofiadus;
A chiw bronfraith buriaith beredd
Yn kanu yn hardd fardd gyfanedd;

A chida yr dudd hedudd hoiwdon
Yn kanu mew*n* llwun fwun benillion.

---

* Llaw A. (1599.)

## II.

## [Can Serch.]

*(Iolo MSS. tud. 228.)*

Gorthrwm a thrwm a thrist fyddaf,
Ni charaf un tro tra fo gauaf,
Oni ddel mai glasai glosydd
A gwyrddlen penn pob glwys irwydd
Mae immi glas urddas gwyrddail,
Calon hoywfron hyfryd adail.

Mewn llwyn ffyrdd duwyrdd dyfiad,
Harddgrwn yw hwn hynaws gaead,
Ni ddaw ai annedd y cas ddynion,
Na neb ond medrus moddus mwynfron,
Hyfryd ei bryd clyd pan ddeilio,
Ty glas parlas purlen arno.

Cyntedd tirion mwynion manwydd,
Ar lawr meillion gleision glosydd
A chog serchog ddoniog ddenus
Yn canu'n lwys lais cariadus
A chiw bronfraith buriaith beraidd
Yn canu'n hardd loyw hoywfardd hafaidd

Eos o'i llwyn yn fwyn gyfannedd
Arail mewn gwyrddail gerddi maswedd
A chyda'r dydd ehedydd hoywdon
A gan yn drylwyn fwyn bennillion.
A phob llawenydd hirddydd hyfryd
O'th gaf wenno yno ennyd.

Moes im gusan eirian aur wuch
A moes er Mair gair gobith wuch.

Ni nai gusan iskafn eskud
Ond dy iru dy in fwl gwbwl ynfud.
Fyn un fainael hardd fwun benprud
Gwn gariad am kur pur iw'r penud.
Kar fi yn bwllig ddiddig ddyddiad
Fab arafus nwufus nofiad,
On i ddelom ir fron oerlom irlen
Dyna fy oed i yn wir hir aniben.

O daw morol fainol feinir
Pwu a gane ir llwun mwun gweddiddir,
Kariad dan wudd herwudd hiraeth
Ai gwnaeth o yn wir o hir obaith.

Moes i'm gusan eirian feinwar,
Lliw cann ydwyd lle can adar,
A moes er mair gair gobeithwych,
Eigu lan fun a'i gael yn fynych,
Fy nyn feinaal hardd fwyn benpryd,
Gwn gariad am cur pur yw'r penyd.

Cusan a'th wnelai, nid llai lledfryd,
Yn engyn dros benn awen ynfyd,
Car fi'n bwyllig ddiddig ddyddiad
Fab afreolus nwyfus nofiad,
Oni ddel amser mwynder moddus
A dail mai ar lwyn swyn cysurus.

Dyna mi'n parlas wyrlas irlen
Oed tyddiaw'n wir, hir anniben
Hir aros bun yn boen immi
A bair i'r galon dirion dorri,
A'm bedd am wenn dan brenn briglas,
Yn iach i 'nynan ai chain wanas.

O daw ymorol fanol feinir,
Pwy ganai i'r llwyn mwyn min glasdir,
Mab sy'n hir arwain orhoen alaeth
Cariad dan wydd herwydd hiraeth
Anniwyg cadarn a geir arno,
Oes a wnai gannoes aros Gwenno.

## III.*

Kla wi o serch annerch Anni,
Oni cha i mewn awr lliw gwawr lili,
Lili ni bu gerddi gwrddion
Tegach ymud na phrud gwenfron.

Gwenfron galon golwg gwiski,
Dan ailie kwur llwur di am lleddi,
Nim lladd kangen feinwen fwuniaith
Tra im gadawo yn fuw mae im riw obaith.

Oes im obaith odiaith hedudd
I chael mewn awr lliw gwawr hafdudd ?
Hafdudd y sydd son am dano,
Wrth bwu i gwna inghwun
Gwen fwun gwrando ?

Gwrando er Kurigg orig eirie,
Klwu kaeth val saeth aeth dan fase,
Mae klais dan yr ais gwn glwuf ysig,
O gariad merch serch nid ddiddig,

Nid ddiddig im gem ar Gymru
Ddyn wuch feinael gael fyn nychu,
Nychdod ai ddwun drwu gwun triga
Onith ga mewn awr lliw gwawr eira,

Yn dwun dygun dolur dy lun
Yn ol nid oes om hoes flwuddun,
O daw gofun pwy a ganodd hyn
Pam waeth pwy fo darfu am dano.

---

* Llaw B. (1615).

## III.

*(O'r Iolo MSS. tud. 231.)*

Claf wyf o serch annerch Anni,
Ag ni chaf honn lonn liw'r Lili,
Ni bu Lili gerddi gwyrddion
Mor deg ym myd na phryd gwenfron

Gwenfron galon golwg gwisgi,
Duw Nef ai gwyr llwyr ym lleddi
Na'm lladd cangen feinwen fwyniaith,
gad imi fyw rho rhyw obaith,

Oes i'm obaith hudiaith hedydd,
Ei chael ai ffriw hoywliw hafddydd,
Hafddydd y sydd son am Dano,
wrthyt fy nghwyn gwenn fwyn gwrando,

Gwrando'n garedig orig eiriau
Clwyf sydd fal saeth ar faeth dan f'assau,
Dan f'ais maen glais mae'n glwyf yssig,
O gariad merch nid serch sorrig

Sorrig iaith lem gem gwlad Gymru
Yt geisio'n wael fain ael fy nychu,
Nychdod i'm dwyn trwy gwyn trengaf,
Am liw od taen eiry gaen gaeaf.

Gaeaf yw arnaf ernych Dybryd
Ym o fin alaeth am f'anwylyd,
Anwyl wyd fun, i'th liw a'th lun,
Eluned am rhoes dan loes anhun.

## IV.*

Crychu r cowrsi myned i garu,
Codi r capp gwyn ar y coryn,
Codwch yn rwydd ar ych yscwydd
Egoriad coch am a wyddoch,
A chais di ffonn bert o linon
A dos ddyn fain tua Ruffain.
Yna i gofyn y Pab i hun :
Pa ddrwg benna ath ddug di yma ?
Ai torri penn, ai lladd celen,
Ai mab a fu gynt ith garu ?
Yno ir eddu Gwenn lygaid-ddu
Mai hi a wnaeth fy marfolaeth.
Yno i wiscir rrawn am finir
I ddwyn penyd dros i bowyd.
O daw gofyn pwy a gannodd hynn
Mab a chalon gowir ffyddlonn.

* Llaw B. (1615).

## IV.

## [Can i ddanfon Merch i Rufain i ddwyn penyd am ladd ei Chariad.]

*(Iolo MSS. tud. 240.)*

Gwae fi wenferch erioed d'annerch,
gan ni bu nes imi'm neges.
Ag ni chawn dal am hir ofal,
A marw ydd wyf o haint gwiwnwyf,
Mawr o bechod yt liw manod.
Ladd dy was mwyn a fu'n d'orllwyn,
Cymmer di ffonn bert o linon
A dos ddyn fain hyd yn Rhufain.
Pab a ofyn itti wenddyn
" Pa ddrwg benna a'th ddug yma ?
O mynni nef rhaid cyfaddef,"
yno ydd eddy gwenddyn anhy
Ei bod ar fai am ai carai
Mai hi a wnaeth ei farwolaeth
Torri calon a fu ffyddlon,
I fab o'i gwlad farw o'i chariad,
A bod ei benn dan dywarchen,
Yna gwisgir rhawn am feinir
Er dwyn penyd dros ei bywyd,
Am ladd oi bodd mab ai carodd,
Maddeued Mair i'm dyn ddiwair
Mal ydd wyf fi n maddeu iddi,
Fy nyn gannaid nef i'w henaid.

V.*

Mae twf ar ben Gwen gannid-liw,
Mor llaes hir-llaes iarlles ydiw
Ar llwyn aur lliw gwiw gwiail aur dyfiaid,
Hyd i sowdwl mwyn osodiad ;
Tal gwyn gwastad moddol hyfryd
Lliw frwd geirw groiw garegryd ;
A thann i thal, grisial graswuch,
Dwu ael feinion lonn lawenwych ;
Goris dwu ael, byn hael hoiw,
Dau lygad lonn leision loiw ;
Dibrudd i grudd, liw gwin rasbi,
Lled grôd ar ôd gwin gwedi i roddi ;
Trwyn main, gweddus, bychan, moddus ;
A min a mel su im bun dawel ;
A mân ddannedd, gweddedd gwiwddoeth,
Eglyr su ymhen Gwen gymhenddoeth,
Mwnwgl claerwyn fal r ewyn ;
I mae dwufron im lloer dirion

* Llaw B. (1615).

## V.

## [Can i Wallt Merch.]

*(Iolo MSS. tud. 229.)*

Mae twf ar benn gwenn gain eiliw,
Modd llaes hirllaes Iarlles odliw,
Llwyn llin lliw gwin gwiail dyfiad
Hyd ei sawdl dyw ei osodiad,
Gwiail awr arian glan glwys waneg,
Uwch dwyael feinion gloywon glandeg,
Talcen gwastodloyw hoyw hardd hyfryd
Lliw ffrwd geirw garw garregryd,
Tan y tal grisial gryswyn lewych
Tirion olygon llonn llawenwych,
Dwy seren serch seirian ei gweled
Ymhen gwenn feingan lan ail Luned
Gorlliw ei grudd gwin rudd rhaspi,
Lledawd aur addawd wedi'i roddi.
Cyfliw rhos gwylltion gelltydd deiliog
cwrel iachusder sywber serchog,
A rhwng deurudd, gwawr ysblennydd,
Trwyn main moddus bychan gweddus,
A min fel mel i'm dyn dawel.
Gwefus mirain liw cain cwrel.
A mân ddannedd a gwedd hoywgoeth
Amlwg ymhenn gwenn gymhenddoeth,
Gên bychan crwn a hwn mor hynod,
Ag yn nydd mynydd mewn gwn manod
Mwnwgl claerwyn deuliw'r ewyn,
Hardd ei dwyfron fy mun dirion,

O fewn i chrys val maen perlys;
Yn hardd o hyd pei mesurid,
Dau fraych hirion wnnion unhyd,
Iowndwf feindwf hoiwdwf hyfryd;
Dwu law wnnion, bysedd meinion,
Ag ewinedd glwys gwridowgwedd;
Hir i hystlys, weddys wiwddyn;
A chanol main gain gymhwusddyn;
Escair ferrgron, wenngron, iowngrair;
A throed da i lun su im bun ddiwair.
Pe cawn am byd ennyd annerch
Dda yr holl dyrnas, fo i cae'r wenferch
Er cael gorwedd lliw gwawr ddiglwu
Imreichie honn tonn Gwenhonnwu.

O fewn meingrys dau berl ysbys,
Hardd ail Enid pei mesurid.
Gan gymwysder glwysder gleindid,
Bun deg dawelddawn ysgawn wisgi,
Ni phlyg manfeillion ar donn dani,
Alarch, wylan, glan ei glwysbryd,
Meindwf, iawndwf, hoywdwf, hyfryd.
Dwylaw gwynion bysedd meinion,
ymmod buan ar we sidan,
Ag ewinedd gwridog ei gwedd
Medrus hwylus heiliaw gwinwledd
Hir ei hystlys weddus wiwddyn
A chanol main gain gymmhwysddyn,
Bergron esgair wengron iawngrair
A throed da i lun i'm bun ddiwair,
Pe cawn i'm byd ennyd annerch
Dda'r byd o'i benn fe'i cae'r wenferch,
Er cael un awr lliw gwawr lywy,
Ym mreichiau honn tonn Gwenhonwy.

VI.*

Dauliw blode, meinion aelie,
Mwun ydiw i champe,
Wrth gyd chware, ow, ow; tlyse
Ow, ow, tlyse.

Tlyse oedd raid im dyn ganaid,
Pentre nis caid,
Wrth droi'r defaid, ow, ow, f'enaid
Ow, ow, f'enaid.

Fy enaid iw'r ferch ar gwr llannerch,
Su'n llenwi o serch,
Ag yn annerch; ow, ow, annerch
Ow, ow, annerch.

Annerch wenddydd, gan i frydydd
Galon gowir,
Ar don newydd, ow, ow, trennydd
Ow, ow, trennydd.

Trennydd ir a ag i rwi yn gla,
Ag oni cha,
Marw fydda, ow, ow, cana
Ow, ow, cana.

---

* Llaw B. (1615).

## VI.

## [Cann'r Marw o'i Serch.]

*(Iolo MSS. tud. 250.)*

Deuliw blodau meinion aeliau,
Mwyn ei champau wrth gydchwarau,
Serw yng ngolau dan aur dlysau,
Gwae fi tlysau, gwae fi tlysau.

Tlysau oedd rhaid im dyn gannaid
Pentre nis caid wrth droi'r defaid,
A gwenn ni phaid a dwyn fenaid,
Gwae fi enaid, gwae fi enaid.

Fenaid yw'r ferch ar gwr llannerch
Ac am wenferch marw o draserch
A mi'n llawn serch yn ei hannerch
Gwae fi annerch, gwae fi annerch.

Annerch Wenddydd gan ei phrydydd
Annerch beunydd ar don newydd
A mwy ni bydd lle ddaf trennydd,
Gwae fi trennydd, gwae fi trennydd.

Trennydd ydd af gwenddydd ni chaf
Gwae fi ddwy'n glaf a marw fyddaf
Ai chlod liw'r haf mwy ni chanaf,
Gwae fi canaf, gwae fi canaf.

Cana ddychan im bun eriann
Mwyn ydiw i chwynfan,
Wrth ymddiddan, ow, ow, poini
Ow, ow, poini.

Poini beunydd am deg i grydd
Mae'n gryddlasu,
Wrth i charu, ow, ow, caru.
Ow, ow, caru.

Caru meinwen, wuneb lawen,
A wnaeth imi,
A welwch chwi, a thilyli
Tilyli, Tylili : Tylyli fabli.
Ni bu i fablu,
Un gwr ond tri,
A thri a thri a thad Anni a thri a chant
A thad y plant.

Ar gwr yn y brwyn, ar gwr yn y llwyn,
Ar gwr yn y ros,
Ar gwr echnos, ar gwr gynne yn y llwyn llysie,
Tilyli a Thilili, Tilyli fabli.

Canaf ogan i'm Bun eirian
O draws amcan lle bum druan
Mwyn fy nghwynfan wrth ymddiddan.
Gwae fi 'mddiddan, gwae fi 'mddiddan.

Diddan y bu cyn ei serchu
Ynawr dygnu a gwallweddu
Yn gruddlasu wrth ei charu
Gwae fi caru, gwae fi caru.

Caru meinwen wyneb lawen
Heb oed i benn a dyn irwen,
Am nis caf wenn gwnn fy Nīen,
Gwae fi dien, gwae fi dien.

Dien i mi meingorph wisgi
Dioer os tydi am gwrthodi,
Gwn wynofi gan ymboeni,
Gwae fi poeni, gwae fi poeni.

Poeni beunydd dwyn ei cherydd
Ochawr ni'm bydd o lawenydd,
Y fory'r dydd ac fe dderfydd,
Gwae fi derfydd, gwae fi derfydd.

Derfydd poeni, bun am deni
Gwnaeth gwenn imi a welwch chwi
Dyn deg yw hi am dug oerni
Gwae fi oerni, gwae fi oerni.

Oerni angau dan wraidd f'asau,
Mi mhen tridiau dan fy ngolau,
Am fun yn fau deuliw blodau,
Gwae fi blodau, gwae fi blodau.

## VII.*

Mae arnai hiraeth a Gwen ai gwnaeth,
Hi am gedewis er ys tri mis,
Ag aeth hithe, Gwen, lliw yr blode,
I dre Seisnig, kaire kerrigg.
Keliogg bronfraith, da i gwur bob iaith,
Ei di ir Mwithig ag na hir drig;
Ymofun howdi am dy yr Baili,
Ag atti, ow dos, gida'r kyfnos,
Hysting di ar ferch a dwg annerch,
A gofun a ddaw Gwen oddiynaw,
Ag oni ddaw Gwen oddiynaw,
Mae genifi lattai difri,
I ddwun annerch rwng mab a merch,
Ar hud yr haf ar kynhaiaf.
I mae afon dan bont Liwmon,
Hi a dru weithie amgulch y dre;
Er Duw'r afon, donnau gleision,
A ni di er neb droi yn dy wrth wuneb
A dwun i mi Wenno heb foddi,
I goed y fron, lle teg tirion,
I goed yr allt, ddyn felen i gwallt,
I goed yr riw, fenaid ydiw?
O daw gofun pwy a ganodd hyn,
Llywelin ap Hwl ach kar ddwbwl,
Ach kar ddwuwaith, ach kydymaith.
Ach gwir frawd fydd, ach brawd bedudd.
Da yr rom i y llyn ben y flwuddun
Well well beunudd drwy lywenydd.

**Llywelyn ap Hywel ap Ieuan ap Gronwy a'i Kant.**

---

* Llaw B. (1615).

## VIII.*

Gwae a ddyge drwm feddylie,
Ag a wubu ledrad garu.
Cariad bun wen ag ael felen,
A bair beunudd im ddwun cystudd.
Ag ni ddeuall dyn, felen i gwallt,
Faint iw ynghlwy, er a ddoitwy.
Un gwunofain ydwi ag Owain
Vab Urien gynt, ag un helunt.
Hwn aeth ar farch, cryf dihavarch,
I gaethiwed carchar caled.
Ag a fu gar bron i elynion
Rwng porth cadarn ag og haiarn,
Ag y Luned, lana or merched,
Drwy ledrad fodd ai ymddifynnodd.
Modrwy wych lan ar fys meingan
A maen arni ydoedd iddi,
Pan giddie fo'r maen ai ddwylo,
yno i ciddie y maen ynte.
Tebig ydwi yn ymhoeni
I ddyn a fai yn dwyn y for forwyn,
Pan fai sychin, ofni dryckin,
Ag wylo i bydd honno beynudd.
Velly i'r rwu fi, am liw'r lili,
Mewn trwm glwyfe dan draed ange,
Nid llai yn ial ar liw grisial,
Na phe torre ymhen i a chledde,
Ond fy nyn Wenn fwyn, a ddichon fy nwyn
Om trwm gystydd i lawenydd.
O daw morol pwy a wnai'r carol
Dyn a wubu ledrad garu.

---

* Llaw B. (1615).

## IX.*

Am fi mewn man noswyl Ifan,
Yn gwrando ar dôn adar gwlltion,
Rwng difyrwch a diddanwch,
Yr adar hyn, cyscu a neuthum.
Pan ddefroais, mi a ddychrynais
Weled y glyn yn lli melyn,
A choed y fron aethe yn llymion,
Ar dail aethe ir pan hyle.
Ple mae r ddwy gog, fwynion, serchog,
Oedd o ddeutu'r glyn yn canu?
Fe fu yma rew ag ira
A phob oerni wedi hyny,
Edrych yn dda di a gi yna
Yn lle r ddwu gog, ddau gyffylog,
O medrid di ddal yr heini
Nwthi a dala genog fechan.

## X.*

Gwae'r mab a el yn ddiymgeledd,
Ymhell oi wlad heb i gariad.
Bum i yn gorwedd yn wan, heb wedd,
Mine heb wubod mod yn darfod.
O ewch hyd atti, doedwch iddi
Fod canwulle Mair yn ole,
Am bod inne ar law Dduw Ne,
Ar ystlys ty yn terfynu,
Gwen, ni chreda mo hyn yma,

---

* Llaw B. (1615).

Onibo fi gwâr ar cefen pedwar,
A phan fo fi gwâr ar cefn pedwar,
Daw Gwen hyd i gwn im cynhebrwng,
Uwch ben fy medd clecian bysedd,
Duw beth a wna am a gara,
Duw Sul nesaf sathru arna
Ni ddoe yn i cho moi roi yno.

## XI.*

Gwrandewch ganmol brig y don,
Iraidd wnion ddurudd,
Gorlliw ewun ymlaen li,
Foi gelir hi boruddudd.

Gwastad wuneb, Gwen lliw'r ôd,
Hi a haeddę glod tragowudd,
Ran o ddyn mewn rinwedd dduw
A hono iw boruddudd.

O baum noswaith niwlog, blin.
Yn rodio gerwin fynudd;
Mi a lawnychwn, uwch yr riw,
Pen welwn liw boruddudd.

Y dyn hyna, ar dyn ianga,
Ar kwaethoka, ar kybudd,
A llawnhycha ar ael nos
Pen welo yr dlos foruddudd.

* Llaw A. (1599).

Keliog bronfraith, koge yr ros,
Y nos, pan faen yn o brudd;
Duw mor llafar i ken yw i kan
Pen welan hu yr lan foruddudd.

Hinon hynaws tre ag gwlad,
Ag aur ar gariad gwinwudd;
Duw tri pherson, Issu hael,
A nel i mi gael boruddudd.

Ni ddymunwn hir ddydd ha,
Pen fydde lasa yr doludd.
Ond kael rodio ryd yr hain
Mia yr fain foruddudd.

Bara a dwr dri gwener gwun
A hyn a nawn i yn ufudd,
Gida gwisko krus o rawn,
Pe gwddwn i kawn foreuddudd.

Gwell imi mwrw tros yr allt,
Fal i gwur pob dyn ai dallt,
Yn y kefnfor heli hallt,
Rag teged gwallt boreuddudd.

O daw gofun dan frig pren,
Pwu a gane i Wen liw splenudd,
Fo ddymune fod dan bren
Efo i wen foreuddydd.

## XII.*

Ni a glowsom son gint fod dynion
Yn roi trioedd o wateroedd.
Mae o ddifri yn fym hoini
Tair ychenaid am y ddyn ganaid.
Ar gynta sudd o drom ddunudd,
O chwant gweled glana or merched:
Ar ail iw hon o lid calon,
Mor anhu a fum wrth i gofun;
Y trydudd peth gwaskadigeth,
Kariad hono a hi im gado.
Hyn iw mwriad Gwen ich kidwad
Mewn hun faelgu, i dymunwn
Ach kael chwithe dan bynlline,
Mewn hun eos ar Ebrill nos,
A bod yno nos Dodecho,
A phrnawngwaith o Fowrth hirfaith,
A bore o Fai wedi klanmai,
Ai roi hau yn un ru fir oeddun.
Kydymaith drwg, yn fyngolwg,
Fu fis Hydre waeth ar delie.
A mis Tachwedd, llati ryfedd,
A fu in erbun waeth ar redun,
A mis Ragfur, ai friw eglur,
A gyhudde yn meddylie.

---

* Llaw A. (1599).

## XIII*

Dydd da yt Ebrill, benill adail,
Gwurdd iw dail y bedw,
Lle mo hyder, mwunder aed
A dyddie da iti yr gwkw.

Dydd da ith galon, eber hon,
Dail y fron yn kiddio,
Kas gan eiddig ddig yn i,
Os dy di ydiw llelo.

Fellu im gelwir ym hob tir,
Doeda wir it gwkw,
Lle bo iddig fals i brud,
Gormes byd im geilw.

Os ir drelum, melun, du,
Ai fellu mae e yn d alw,
Ni rown wenwun ar i saig,
O daw i wraig e ir fedw.

Mina i gurogi yn wch nor gwint,
Kyn fy mund oddiwrtho,
A roi arno karchar fest,
Rifai i ynguest o llelo.

Galw yr fronfraith, mwuniaith eos,
Llinos lan, yschidogill,
Alarch, hedudd edenudd difalch
Kilog mwualch, mangill.

---

* Llaw A. (1599).

Brig y bedw, banadl mai,
Briallu knau a million,
Dyna ddauddeg teg ar fowud,
Kor bru nychlud tigllon.

Waeth yn ormod pechod trwm,
Grogi hwn ymlaen llaw,
Gad ti eiddig iw ddyfalu,
Paid ti a hynu yr gwkw.

Taw ath braitio, llelo llwud,
Ai fellu ir wut ti ym erbun,
Kilia om golwg dos di ymhell,
Nid wut ti well nar gelun.

## XIV.*

Dydd da ir tri mis, dilis difai,
Ebrill, Mai, Mehefin,
Dyna yr tymor gore sudd,
Ar goed a gwudd ag egin.

Pob ederun yn y koed,
Su yn kynal oed yn fwunfalch,
Kilog bronfraith, mwuniaith eos,
Llinos llon ar fwialch.

A phob kalon, gron, gowithas,
Pen fo glas y goedwig,
Hi a lawenhycha pen ddel ha,
Ond y kna gan Eiddig.

* Llaw A. (1599).

Am fi ar hyn o gerdd, mi a glown
Gwurdd iw gown y gwkw,
Yn rroi lle, ow llelo llwud
Pa fodd ir wut ti yn kadw?

Kroeso yr gwkw bach i dir,
A Duw mor hir i teriast,
Fo roes Eiddig lawer sen,
I mine er pen ith welaist.

Kymer afel intho fo,
A dyrro segfa iddo,
A lladd unwaith hwnw yn siwr,
A dos di yn wr i Weno.

Mine a gefais afel dda,
Yn y kna mantach ddu,
Ag ai rrois o dana i lawr,
Nid oedd fawr moi allu.

Pwu ni ch'ardde, pen fai gla,
A glowe gna yn gofun,
Doro imi ynwaith nawdd er Mair
Ni doeda i un gair yn dy erbun.

## XV.*

## Karol o'i Gariad.

Myfi ywr merthyr tostur lef
 Duw Iesu or nef am helpio
Megis llong rhwng ton a chraig
 O gariad gwraig rwy n kirio.

  Och trwm ywr loes i rwyn i ddwyn
  Heb obaith help na swyn
  Onid Duw ar ferch ai rhoes.

Drylliodd Cariad glwyde fais
 Am seren gwrtais amlwg
Mae arnaf glwyfe mwy na mil
 Wrth graffy ar gil i golwg.

  Och trwm ywr loes, &c.

Kil i golwg fal dan haul
 O gusgod dwy aul feinion
Un sym dwyn ar llall im gwadd
 Ar ddau syn lladd fynghalon.

  Och trwm ywr loes, &c.

Kalon fyngwir galon i
 Oedd ag ihi ymgowleidio
Ymgowleidio hon ni chawn
 Pei cawn ni feiddiwn geisio.

  Och trwm ywr loes, &c.

---

* Llaw D. (1637-8).

Ag o digia teg i ffryd
  Ffarwel i'r byd a ercha
Ar y ddayar help nid oes
  Fy nerth am hoes a golla.

Och trwm ywr loes, &c.

Ag o colla i foes am hon
  Rwyn ddigon bodlon iddi
Er i glanach meinir syth
  Nid allwn byth i golli.

Och trwm ywr loes, &c.

Kollodd glendid yr holl fyd
  A Duw i gyd ni tyrrodd
Ag wrth lunio dailiwr ton
  Yn wineb hon fo i gwreiddiodd.

Och trwm ywr loes, &c.

Gwreiddiodd hithe dan fy mron
  O gariad, glwyfon anial
Wanach, wanach wy bob awr
  Drwy gariad mawr a gofal.

Och trwm ywr loes, &c.

Na ofelwch troso i mwy
  At Dduw ir wif i yn myned
Rwy yn madde i bawb ond iddi hi
  A ffawb i mi maddeued.

Och trwm ywr loes, &c.

Fy holl frins na fyddwch dig
  Fo am rhoes y meddig heibio
Help nid oes na syt ym fyw
  Ffarwel a Duw am helpio.

Och trwm ywr loes, &c.

Och trwm ywr loes a rwy yn i dwyn
  Heb ym obaith help na swyn
Ond Duw ne'r ferch ai rhoes
  Mwy help i mi nid oes
Ond amdo, clûl, a gwledd, elor, arch, a bedd,
  A nawdd y gwr am rhoes,

Llewelyn ab Hwlkyn *o Fon ai cant.*